E. L. Parry

Y Marw wedi ei chodi yn fyw
Atebydd
Anerchiad
Beth ydyw yr Efengyl
Beth yw Mormoniaeth
Y Gloriau
Gau Brophwydi
Hanau
Cwcw y Don
Amddiffyniad y Saint
Adolygiad

# Y FARW WEDI EI CHYFODI YN FYW:

NEU'R

# HEN GREFYDD NEWYDD.

# TRAETHAWD

YN DANGOS

## ANGHYFNEWIDIOLDEB TEYRNAS DDUW.

**GAN CAPT. D. JONES.**

---

"Canys myfi yr Arglwydd ni'm newidir," &c.—Malachi.

"A rhai yn wir a osododd Duw yn yr Eglwys; yn gyntaf Apostolion, yn ail Prophwydi, yn drydydd athrawon, yna gwyrthiau: wedi hynny doniau i iachau, cynorthwyau, llywodraethau, rhywiogaethau tafodau."—Paul.

"Eithr pe bai i ni, neu i Angel o'r nef Efengylu i chwi amgen, na'r hyn a Efengylasom i chwi bydded Anathema."—Paul etto.

"Ac efe (Crist) a esgynodd i'r uchelder ac a roddes roddion i ddynion."

"Ac Efe a roddes rai yn Apostolion, a rhai yn Brophwydi," &c.—Paul fyth.

"Dymunaf ar bob Cymro a wêl y traethodyn hwn ei ddarllen yn bwyllog a diduedd, ai farnu (nid cyn ond wedi ei gymharu) wrth y Gyfraith a'r dystiolaeth, wrth yr hon y bernir ni oll cyn hir; ond ni foddlonaf, i Dduwinyddion y byd eistedd mewn barn arnaf, am na osodwyd hwy yn farnwyr."—Yr Awdwr.

"Profwch bob peth, a deliwch yr hyn sydd dda."—medd Paul.

"Y neb a attebo beth cyn ei glywed, ffolineb a chywilydd fydd iddo."—Solomon.

---

**TRAETHAWD, Rhif. 1af.**

---

GWRECSAM:

ARGRAFFWYD GAN WILLIAM BAYLEY, HEOL-ESTYN.

1845.

# RHAGYMADRODD.

---

Un o wrthrychau godidoccaf y bŷd, ïe, prif addurn y greadigaeth, yw, *Meddwl annibynol*, rhôdd y *nef* yw hon i *ddynion*, a'r hynottaf o'i holl roddion : yr hwn ni feiddia feddwl drosto ei hun, nid yw ddynol, a'r hwn nad ymddwyn yn gyferbyniol, iw'r rhagrithiwr gwaethaf o'r hîl ddynol! Ychydig, mewn cydmariaeth sydd yn meddu ar yr anian auraidd hon, am nad ydynt yn gwybod ei gwerth; ond yr wyf fi, er yr unig un o hîl Gomer ar a welais yn y wlad) yn honi fy hawl, nid yn unig i gredu, ond hefyd i amlygu yr athrawiaeth a osodir allan yn y traethawd hwn, ïe mae'n ddyledswydd arbenig arnaf gyhoeddi 'r hyn a gredaf yn wirioneddau dwyfol; pêd esgeuluswn hyny ni byddwn ddieuog ger bron fy marnwr. Gwirionedd yw'm cleddyf, a gŵn, mae'r, hwn ydwyf." Sy'n cynal fy neheulaw: ei waith Ef yw, am hyny nid ofnaf beth a wnêl dyn i mi!

Ei air ef, yw'r unig reol anffaeledig a hyny heb un esponiad *ffaeledig* arno." A dymunaf ar y darllenydd, gydmaru, yn onest, a diduedd y pethau hyn, (nid wrth Gyffes yr hên dadau,) ond wrth y Gyfraith ar dystiolaeth, oni ddywedant yn ôl y gair hwn, hynny sydd am nad oes oleuni ynddynt. Pa un a ydyw y pethau hyn felly? Sydd holiad pwysig iawn, ac a ddylai gael ei atteb, nid *wedi* ond *cyn* eu cymharu a'r drych cywir; canys y neb a attebo beth cyn ei glywed ffolineb a chywilydd fydd iddo." medd Sol. Dywed Paul, "Profwch pob peth, deliwch yr hyn sydd dda," Na fydded i neb ddyfod i benderfyniad byrbwyll am yr athrawiaeth hon, o herwydd ei bod yn ymddangos yn *newydd* a *dieithr*, canys yr hynaf un o bob athrawiaeth yw; a sicr yw na bydd ddieithr i neb yn yr ail-fyd, os bydd yn hwn.

Cyfrifaf yr hwn a'i *prawf* yn anysgrythyrol, (mewn yspryd addas,) yn *ffrund* penaf, ïe yn wladgarwr dâ; a rhwymaf fy hun i alw y cyfeiliornad yn ol, (wedi ei BROFI felly, y Bibl yn unig, fel mae'n ysgrifenedig, yn rheol) yn y modd mwyaf cyhoeddus. Ond, o'r ochr arall, os condemnia neb ef cyn ei chwilio, gan roddi rhwystrau ar ei ffordd, efe a brawf ei hun yn annoeth ac annhêg, yn wrthwynebwr y gwirionedd; ie yn elyn yw genedl ei hun; a bydded Solomon yn farnwr arno.

Na farner yr athrawiaeth hon yn ôl yr ystoriau disail, a'r mil ond un o chwedlau celwyddog, sydd eisoes wedi gorlifo'r wlad yn erbyn yr enw hwn; canys gallaf *brofi pob* un a glywais etto, yn gelwyddog a disail; a rhoddi hollol foddlonrwydd i bob dyn, a addef un math o brawf.

Ni wna un dyn egwyddorol feio ar fy iaith, os nad yw mor ramadegol; oherwydd na fuom ymhlith Cymry nemawr er yn fachgen; ond wedi bod er's dros ddeunaw mlynedd, bron o hyd, ymysg iethoedd ereill, lle na chlyw'n air o honi; yn enwedig am y saith mlynedd diweddaf, ni sŵniodd un Cymro dyrtyr fwyn fy ngwlad am awr yn fy nglyst; ac ni allai dim llai na chariad at fy ngwlad, a dymuniad mawr i'm cyd-genedl gael y gwir; ie fel y mae yn yr Iesu, fy nghymell, dan y fath anfanteision; i gynyg iddynt yr egwyddorion hyn, gan wybod eu bod yn wahanol i bob athrawiaeth sydd yn y wlad! Ond gwell genyf anturio ar fy nyledswydd, ar gost pob peth, hyd yn nod enw da (yr hwn a gyfrifaf yn well nac aur coeth lawer) ie, os bydd raid rhoddi bywyd hefyd yn offrwm gwirfoddol dros y gwirionedd, nac anturio ar gost cydwybod effro i ŵyddfod ei hawdwr, i gyfarfod un Cymro, wedi celu y pethau hyn oddiwrtho!!

Gwrecsam, Ebrill 4, 1845.

Item 8

# "HAMAN"

## YN HONGIAN AR EI GROGBREN EI HUN!

NEU

*Daniel Jones (ddall) a'i lyfr yn profi gwirionedd Mormoniaeth!!*

---

Yr esgusawd a gynnygiwn i'n darllenwyr oherwydd galw eu sylw at wrthddrych mor annheilwng a gwael a chanwr baledi, a'i *falot* enllibus yw, oherwydd y gefnogaeth a'r lledaeniad a ddyry awduron, "Peirch," a chrefyddwyr ein gwlad, i'w *falot*. Nid yn unig mae golygydd "Parchedig" yr "*Amserau*" wedi dyfynu yn helaeth y tameidiau a foddia ei chwaeth ef orau, a'u gosod ar ford ei ddarllenwyr am wirionedd, ond gwerthir ei falots mewn capeli ac ysgolion Sul, gan roddi cymmeriad uchel i'r awdwr yn awr, er nad oes ond ychydig amser er pan ysgymunwyd ef gan yr Annibynwyr am droseddau na chaniata cyfraith i ni eu henwi! Ond, syndod! Pwy ond un o "Beirch" yr enwad hwn, sef Josiah Thomas Jones, golygydd y "*Drysorfa*," a welir eisoes yn coleddu y cyfleusdra cyntaf i argraffu, os nad i fod yn "gyfaill" i'w helpu i lunio camgyhuddiadau ar ereill, o elyniaeth at y gwirionedd! Dau bartner go gymharus. Dyma y Parch a gyhoeddodd y "*gyffes*" wyrgam hono am y Saint yn ei *Drysorfa* aflan, ac a wrthododd genad i ni amddiffyn ein hunain: a thebyg mai un o'i branciau dan arteithiau y fflangell a gafodd drwy'r *Prophwyd* a achosodd iddo ymddial y ffordd hon. Ond gan mai ei fysedd ei hun oedd boethaf yn y tân oherwydd na allai y dall werthu y baled yn ei wlad ei hun, ond cael ei ymlid ymaith hyd yn nod gan grytiaid y ffeiriau, oherwydd ei dwyll, dacw ei frawd anwyl o Lynlleifiaid, cyhoeddwr, coleddwr camgyhuddiadau parhaus ar y Saint fyth, yn ei helpu o'r *scrape*, a chael gwerthiad o'r balot drwy ei chodi i'r gwynt yn ngwyntyll yr "*Amserau*." Ac etto methent gael gwerthu y cyfan, hyd nes eu dosparthu i'w hysgolion Sul a'u capeli; a chan fod "*Parch.*" yn gynffon i'r ystori, ystyriai y *frawdoliaeth* hyd y nod yn Bethesda, Merthyr, yn fraint uchel gael bod yn werthwyr baledi yn gyhoeddus yn eu cyrddau ar y Sul! Wedi deall y bartneriaeth, pwy a ddysgwylia lawer o wir gan y cyfryw? Mwy cywilydd o'r ddau, ei symbylwyr na'r dall ei hun; canys addefa y "*cyfaill*" dros y "*cat's paw*" yn y rhagymadrodd, "mai ar ol cymhelliadau taerion gan ymgynghori difrifol a brodyr a chyfeillion crefyddol o wahanol enwadau," yr anturiodd ar y gorchwyl melldithlawn o gyhoeddi anwireddau gwarthus ar ei gymmydogion oherwydd eu crefydd. Ac y mae ei "*gyfaill*" yn dangos hyd y nod ar yr amlen gyntaf na waeth ganddo beth a haera, pan feiddia sicrhau fod "yr hyn a atebir gan Daniel wedi cymmeryd lle yn llythyrenol, fel y mae ar lawr." Ond pa fodd y gwyddai hyny, ni ddywed! Ac ni allai wybod oddieithr ei fod yn bresennol gydag ef yn y cyrddau, a phob lle y bu yntau, yr hyn ni hóna fod. Pwy yw, a pha ddyben sydd gan y cyfaill hoff hwn i danysgrifio y fath beth, tybied?

[PRIS CEINIOG.].

Yr wrthddadl a gynnygir i brofi "twyll Mormoniaeth," oddiwrth yr amgylchiad hwn yw, am na chafodd y dall hwn ei olwg yn y fan. Ac er profi twyll y resymeg yna, a dangos y gwall, deued y darllenydd gyda ni yn bwyllog a diduedd at enghreifftiau cyffelyb, ac yna caiff weled mewn drych cywir mai profi gwirionedd, ac nid twyll Mormoniaeth, a wna ein cyhuddwyr. Yn gyntaf, darllener hanes Iesu Grist yn rhoddi eu golwg i ddau ddyn dall yn Matt. ix, 27—30. Yma profir mai eu ffydd a'u cymhellodd i'w ddilyn hyd y ffördd, gan lefain am drugaredd; ac yn mhellach etto dilynasant ef i'r ty; ac yna noda Iesu Grist y pegwn ar ba un yr ymddibyna eu llwyddiant yn hollol, sef, "A ydych chwi [y deillion] yn CREDU Y GALLAF FI wneuthur hyn?" ebe efe. Yn awr paham y gwawdir y Saint am ofyn yr un geiriau? Pe buasent yn ateb nad oeddent yn credu, a'i tybied y cawsent eu golwg? Ni fydd ein cyhuddwyr mor ffoled a haeru hyny, onide cyhuddant Iesu Grist o fod wedi gofyn cwestiwn ffol ac ofer! O'r ochr arall rhaid addef bod eu golwg yn ymddibynu ar eu ffydd, yr hyn a brofir gan Iesu Grist tuhwnt i ddadl, canys ni chyffyrddai a'u llygaid nes iddynt addef eu ffydd yn bendant, "Ydym, Arglwydd," ebe hwy. Yna y cyffyrddodd efe a'u llygaid hwynt, gan ddywedyd, "sylwer yn graff! ai byddwch yn gweled, tybied?" O nage ddim, ond "*yn ol eich* FFYDD *bydded i chwi*," ebe efe; felly y dywedodd y Saint wrth y dall hwn yn Llanybyther. Ar bwy y buasai y bai pe na chawsai y rhai hyny eu golwg? Nid ar Iesu Grist gobeithiwn. Ond ïe, buasai hyny yn ei brofi yn dwyllwr, ebe Phariseaid yr oes hóno. Nage, ar y deillion y buasai y bai, ebe Phariseaid ein hoes ni, ac ar yr un anadl beiant y gweinyddwr â'n crefydd, am na chawsai y dall hwn ei olwg! Rhyfedd fath ddallineb yw hyn! Dyma beth yw cyflawniad llythyrenol o eiriau Iesu Grist, "Os y dall a dywys y dall, syrthiant i'r ffôs ynghyd." Os dylem ni wneuthur pethau fel hyn er cael gan bobl gredu, paham nad dyna ddyben Iesu Grist? Os felly, paham y "gorchymynodd efe iddynt, trwy fwgwth, gan ddywedyd, gwiliwch nas gwypo neb?" Os ei ddyben oedd cael dynion i gredu ynddo, drwy fwrw allan gythreuliaid, fe'i siomwyd, canys bu yr effaith mor hollol groes ag a fuasai yn Llanybyther, pe cawsai y dall ei olwg, oblegid yr edrychwyr Phariseaidd, yn lle credu, a ddywedasant mai "trwy benaeth y cythreuliaid y mae efe yn bwrw allan gythreuliaid." Adn. 34.

Enghraifft arall a brofa ein cyhuddwr dall ni â'i bleidwyr yn y ffôs a welir yn Marc viii, 22—26; Luc ix, 7—11. Yma gwelir hefyd, 1. Mai yn ol ei ffydd y derbyniodd y dall hwn ei olwg, yr hyn a brofir gan y ffaith, sef ufydd-dod i'r hyn a barodd y gweinyddwr. 2. Profir fod ganddo fwy o ffydd, ac wedi ymdrechu yn daerach a mwy amyneddgar nag a ddarfu Daniel dywyll, oherwydd arferwyd y moddion yn amlach gyda hwnw na hwn; addefodd hwnw ei fod yn "gweled dynion fel prenau yn rhodio," ac addefodd Daniel ei fod yn "gweled y ganwyll yn y ganhwyllbren ar y ford." A'r gwahaniaeth penaf oedd fod y llall wedi cael ei olwg yn raddol, yn gyfesur i gryfhâd ei ffydd, drwy fyned ar *ol yr ail weinyddiad* i lyn Siloam i ymolchi, ac ar ei ufydd-dod cafodd ei olwg; pan, yn lle dilyn yn mlaen yn yr ymarferiad â'r moddion mewn ffydd, aeth Daniel yn ol i'r gaddig dan ein

herlid yn ddiarbed! Ac yn awr, oni ddichon hyd y nod y dall weled mai arno ef yr oedd y bai, ac nad oedd yn deilwng o'r fendith gan Dduw oedd yn gwybod ei galon, ac yn pwyso ei ysbryd ar y pryd?

Dywedai y Phariseaid rhagrithiol nad gwyrth dim ond a wnelid ar gyhoedd, yn gyflawn ar y cais cyntaf, ac heb arferyd moddion yn y byd; ac felly dysgwylir i ninnau wneyd yr hyn a ofynant hwy yn awr, ond gwelir nad ar unwaith na dwywaith yr iachawyd y rhai uchod, nad heb arferyd moddion, nad ar gyhoedd, ond y naill yn y tŷ, a chymmerodd y llall allan o'r dref yn hollol i fan dirgel rhag fod anghrediniaeth yr arwydd-geiswyr drwg yn gweithredu yn erbyn ffydd y derbynydd. Cyfaddefa y rhai hyny mai wrth barhau i ymarferyd y moddion o dro i dro y cawsant eu golwg.

*Wedi* i mi fyned ac ymolchi, ebe y dall, ac nid cyn hyny "mi a gefais fy ngholwg." Nid yw yn dweyd pwy hyd y bu wrth y gorchwyl yn rhwbio y dwfr ar ei lygaid, ond ei fod wedi glynu wrthi yn ddibaid nes llwyddo. Wel, a wnaeth Daniel drial mor deg a hyn o'r Saint, tybied? Atebwn yn hŷf, naddo ddim yn debyg, ac ni chawsom le i gredu ei fod, ond rhagrithio ar y cyntaf. A phrofir hyn drwy'r cyfan. Haera efe, "addawsant yn ddios y cawswn hwynt [sef ei lygaid] cyn i mi fyned atynt," ebe efe, yr hyn sydd yn anwiredd dyfeisiol bob gair, fel y profa a ganlyn.—Pan y daeth i gyrhaedd ein gwybodaeth gyntaf am fodolaeth y fath un oedd, pan ar ol darfod pregethu i dorf luosog ar nos Sul, gofynodd a gaffai ei fedyddio, ond oherwydd i ereill a'i hadwaenai yn burion fy hysbysu am ei gymmeriad, ei fod wedi cael ei dòri allan oddiwrth yr Annibynwyr, oherwydd * * * ac na fu yn gwrando ond unwaith or blaen arnom, a bod ganddynt seiliau crytion i gredu mai rhagrithio yr oedd yn awr; dangoswyd iddo yn fanwl oddiwrth esiampl Simon Magns, Judas, ac ereill, y perygl o geisio cuddio ei ddybenion oddiwrth chwiliwr y calonau, mai pethau pwysig, ac yn gofyn sobrwydd mawr yw ymdrin ag ordinhadau dwyfol; er hyny proffesai ei onestrwydd a'i awydd i gael ei fedyddio y pryd hyny. Yr hyn a barodd i ni egluro trefn Duw yn ol yr ysgrythyrau o barthed i'w olwg, ac (yn ngwydd lloned y tŷ o'r gwrandawwyr a arosasant ar ol) i hysbysu yn bendant nad oeddem ni na neb o'r Saint yn, nac erioed wedi proffesu un gallu gwyrthiol o honom ein hunain, ond yn unig dangos y ffordd a'r moddion a ordeiniodd Duw fel y caffai dynion y bendithion ganddo *ef, nid genym ni yn* ol gonestrwydd eu calonau a'u hufydd-dod i'r drefn. Dywedasom er prawf o hyn (fel y tystia y gwrandawwyr hyd heddyw) nad oeddem yn addaw ei olwg iddo yntau, ac ein bod yn adnabod rhai deillion oeddynt yn yr eglwys hon er's blynyddau, ac wedi derbyn bendithion a doniau mawrion gan Dduw, ac heb dderbyn eu golwg etto. Do, buom yn fanwl i wneuthur hyn yn ddealladwy, oherwydd ein bod yn ofni fod ei ddyben yn ddrwg. Pan glywodd efe hyn, llwfrhâodd nes y sylwodd pawb arno, gan daflu esgus yr oedai y peth am rai dyddiau; a'r hyn dymunodd y dorf iddo hysbysu yr amser y deuai. A dangosasom iddo yn absenoldeb prawf i'r gwrthwyneb y bedyddid ef ar ei broffes o'i ffydd a'i edifeirwch, ac y byddai y canlyniad rhyngddo ef a Duw, ac nad allem yn ol yr ysgrythyrau wrthod gwneyd.

Cyn myned ymaith dywedodd y deuai yno y dydd Mawrth canlynol

yna cymmerasom y cyfleusdra i gyhoeddi y byddai pregeth ar y pryd hyny, ac os deuai y gwr dall yno, a dymuno, y caffai ei fedyddio. Ac er nad oedd neb a'r a wyddom yn dysgwyl y deuai, yr oedd efe a thyrfa fawr o bobl wedi ymgasglu erbyn yr amser, y rhai a wrandawsant yn astud a gweddaidd iawn. Drachefn, a thrachefn dywedasom "nad oedd gwirionedd yr efengyl yn dibynu ar pa un a gaffai y dall hwnw ei olwg ai peidio, fod ein crefydd yn wirionedd ysgrythyrol a safadwy cyn i ni glywed son am ei enw ef, ac y parhai mor wirioneddol wedi iddo ef a'i goffadwriaeth fyned i ebargofiant, fod yno amryw oeddynt eisoes yn gwybod hyn heblaw cannoedd o filoedd drwy'r byd, &c." Profasom yn ddealladwy i'r dorf bod amheuaeth gref ynom am ei ddyben, er nad *profion* digonol i'w wrthod. Gofynwyd iddo yn ngwydd y dorf gyffesu ei ffydd a'i edifeirwch, yr hyn ni wnaethum i neb erioed o'r blaen ar lan y dwfr. Ac er profi ei ddyben drygionus, rhoddwn gerbron dystiolaethau dynion o gymmeriad uchel; yn ffermwyr, crefftwyr, &c., a'i hadwaenant, ac a'i clywsant eu hunain, amryw nad ynt mewn un cyssylltiad â'n crefydd ni, ond o ddymuniad daionus i ddidwyllo y wlad drwy wrthbrofi ei gamgyhuddiadau a'i dwyll, a gynnygiasant eu henwau.

"Yr ydym ni yn tystiolaethu ein bod yn bresennol pan fedyddiwyd Daniel Jones; ac oddiar ofn nad oedd yn dyfod oddiar ddyben cywir, parwyd iddo gyffesu ei edifeirwch ar lan yr afon, yr hyn ni ofynwyd i neb arall yma. Yr oedd wedi tystio mai ei ddyben oedd cael maddeuant, ac nid ei olwg yn benaf; ac er nad allem ei goelio, etto nid oedd modd ei wrthod, fel y gwyddai, ar y tir yna. Ar ol ei fedyddio, derbyniwyd ef yn y cwrdd yr hwyr hòno yn aelod, drwy yr ordinhad o arddodiad dwylaw yn ol yr ysgrythyrau. Wedi cynghori ac annog i fyw yn dduwiol, &c., gofynodd Daniel, trwy gyfarwyddyd un o'r blaenoriaid, am gael eneinio ei lygaid ag olew, yr hyn a wnaed gan Abel Evans; ond nid aeth defnyn ar ei wallt, nac ar ei ddillad, fel y dywed efe. Ar ol hyny, arddododd y ddau henuriad, Abel Evans, a Capt. D. Jones, ddwylaw arno, a gweddio ar i'r Arglwydd fendithio ei ufydd-dod i'r drefn hon, yn ol ei onestrwydd a'i ffydd, hyd y nod nes cael ei olwg, os oedd hyny yn rhyngu ei fodd ef. Wedi hyny, clywsom Abel Evans yn dweyd iddo weled fel dwy seren yn mhell oddiwrtho, ac efallai fod hyny yn arwyddo y caffai ei olwg ryw amser dyfodol, *os byddai byw yn ffyddlon*. Hefyd, yr ydym yn tystio i ni glywed Daniel yn dweyd, wedi diweddu y cwrdd, "ddarfod iddo ef ddod i weled y ganwyll yn y canwyllbren ar y ford. Dywedodd hefyd, "'Rwy'n credu pe buasai y brawd Jones yn para i weddio ychydig yn fwy gynen y cawswn fy ngolwg yn hollol." Annogwyd ef i ymarferiad ffyddiog â'r ordinhadau yn y cyrddau dilynol, ac mai y Cyfranwr o bob rhodd ddaionus a wyddai yr amser a'r dull goreu i gyfranu: dywedodd Capt. Jones wrtho, mai o ran y cymmydogion, gwell fuasai iddynt pe na chawsai efe ei olwg y pryd hyny, oherwydd mai ei erlid fwyfwy y buasent, fel y ceisiasant ladd Crist a Lazarus; mai pa mwyaf o allu Duw a amlygid yn awr fel cynt, mai mwyaf y cynddeiriogai gelynion y gwir; neu os credent drwy weled arwydd, na feddyliai efe cystal o honynt, oherwydd y dywed y Bibl "fod ffydd yn dyfod trwy *glywed*," ac nid trwy *weled*. Wedi hyny, ymadawsom dan obeithio fod Daniel yn onestach na phan ei bedyddiwyd; ac os felly, credem y gallai gael ei olwg ryw amser dyfodol, canys gwyddem mai Duw yn unig sy'n cyfranu. Yr oedd cyhoeddiadau Capt. D. Jones, ac Abel Evans, yn eu galw ymaith boreu dranoeth. Daeth Daniel Jones i'n cwrdd neillduol nos Iau canlynol, ac i'r cwrdd dydd Sul, yr hyn oedd yr oll o'r cyrddau neillduol ag y daeth iddynt. Ond ni cheisiodd ei eneinio y pryd hyny ychwalth. Y mae yn arferiad gan y Saint, o ddewisiad, i dystiolaethu am y daioni a dderbyniasant oddiar law yr Arglwydd, am y gobaith sydd ganddynt, a'u teimladau at Dduw a'i waith. Yr oedd blaenor y cyfarfod yn ein hannog i hyn, ac nid dim yn rhagor. Tystiolaethodd y rhai a ewyllysiodd, fel y dewisent, yn y cwrdd nos Iau, a Daniel hefyd a hysbysodd ei ddymuniad i gael sicrwydd, yr hyn a wnaeth yn burion. Credwn mai oddiar yr achlysur hwn yn unig y cyhoeddodd i'r byd "ein bod yn ceisio ganddo wneyd llw." Nid oedd genym hawl i weinyddu llw; a pha ddyben fuasai ei lw ar y fath beth? Nid oedd gair o son am lw, na dim yn debyg, yn ein plith. Ei anwiredd yw bob gair. Ni ddywedodd ddim yn y cyfarfod olaf y bu gyda ni; ond arwyddodd yn eglur nad oedd yn credu yr athrawiaeth, ond am

dynu yn ol. "Ei farn ef oedd," meddai, "mai Capt. Jones, ac Abel Evans, oedd y twyllwyr," a'n bod ninnau wedi cael ein twyllo ganddynt. Ni ddaeth efe atom wedi hyn, ond gwnaeth ei waethaf i'n cam-ddarlunio. Am yr hyn a ddywed, fod Capt. Jones wedi dweyd mai dyn oedd efe wedi cael maddeuant o'i bechodau, a'i fod ef wedi cael tystiolaeth o hyny, cyffelyb yw i'r hyn a ddywed fod Capt. Jones wedi bwrw allan gythraul o Abel Evans; a thystiwn nad oes air o wirionedd yn y naill na'r llall. Haeriadau ereill hollol ddisail o'i eiddo yw, ein bod yn hòni bod yn cyfrinachu yn fynych ag angylion, &c., a'n bod yn galw Abel Evans yn brophwyd. Yr unig achlysur a gafodd i ddweyd fod un o'r rhai cadarnaf yn y ffydd yn addef nad oedd wedi derbyn dim, oedd, o achos i hwnw ddweyd nad oedd wedi derbyn *doniau ysbrydol* pryd hyny, megys "llefaru â thafodau," "prophwydo," &c. Ni arferwyd y doniau yn y cyrddau y bu Daniel ynddynt, ac felly ni allasai fod wedi cael un arwydd er dangos gwirionedd ein crefydd, oddieithr iachad uniongyrchol un chwaer o'i anhwyldeb yn ei bresenoldeb, a'r hyn a allasai efe dderbyn ei hunan. Yr ydym ni oll sydd â'n henwau isod yn tystio gwirionedd y pethau uchod:—Thomas Jeremy, John Davies, Benjamin Jones, Richard Jones, Thomas Nash, John Evans, Evan Hughes, Sarah Jeremy."

Yn awr, onid yw hyna yn ddigon, oddiwrth y fath liaws o dystion geirwir a pharchus yn mhlith eu holl gydnabod, i brofi twyll anwireddus un baledwr dall, serch ei fod yn cael ei bleidio gan holl Phariseaid Cymru? Ydyw, yn ddiau, i bob carwr y gwir, yn *stampio stigma* ar dalcen y twyllwyr, ac yn profi gwirionedd ein crefydd mewn llawer dull, yn erbyn eu hewyllys. Os dynoethir "twyll Mormoniaeth" o herwydd eu hufydd-dod i ordinhadau yr efengyl yn ol gorchymynion ac esiamplau Iesu Grist a'i apostolion, ac yn ol yr ysgrythyrau, onid twyll yr awduron duwiol a orchymynasant felly yw hyny? Onid dynoethi eu twyll eu hunain y mae y "Peirch," a'u gwawdiant, er eu holl broffes mai yr ysgrythyrau yw eu rheol? Ac os oedd ufydd-dod yr apostolion i orchymynion eu Blaenor, yn brawf o wirionedd eu crefydd, boed y canlyniadau yr hyn a ewyllysiai efe, paham nad yw yr unrhyw ufydd-dod o'n heiddom ninnau i'r un gorchymynion anghyfnewidiol yn ogystal profion o wirionedd ein proffes ninnau? Atebant os gallant, heb fod yn anffyddwyr proffesedig i wadu y cyntaf hefyd. Ai tybied y meddylia un dyn rhesymol y byddai genym ffydd ddigonol i barhau i ddefnyddio yr olew, ac arddodi dwylaw, er derbyn iechyd corfforol, ar hyd y blynyddau, pe na baem byth yn derbyn iechyd drwy hyny, ac y parhâai y Saint wrth y cannoedd i wneuthur hyny fel y gwnant, yn lle arferyd phisygwriaeth meddygwyr fel y gwna ereill? Nid ydym yn credu yr addefa ein cyhuddwyr fod genym ddigon o ffydd i hyn ychwaith. O'r goreu, bydded hyn yn dystiolaeth iddynt ynte, fod y ffaith hon yn profi, ar eu haddefiad hwy, fod ein Duw ni a'i addewidion yr un i'w blant yn awr â chynt; ac ystyriant pwy, ac am beth, ein herlidiant. Gallasai pagan feddwl mai profi y cyfryw orchymynion yn ysgrythyrol a fuasai yn terfynu pob dadl gyda'r rhai a broffesant eu bod yn credu y safon dwyfol hwnw. Ond nid felly yma; canys y rhai a'u dilynant agosaf a wawdir waethaf! Chwi anffyddwyr, cuddiwch eich penau mewn cywilydd dros Phariseaid ein "hoes oleu ni."

Os yw fod y Daniel Jones hwn heb gael ei olwg ar ol bod yn ein heglwys dri thro yn profi ein crefydd yn gau, onid yw methiad Paul i iachâu Timotheus, a'r ffaith o'i fod wedi gadael Trophimus ei gydswyddog yn glaf yn mhlith paganiaid Miletum, ar ol iddynt fod yn eu heglwys hwy am flynyddau, ac yn ffyddlon hefyd, yn profi yn amlycach o lawer, yn ol yr un resymeg, mai gau oedd eu proffes hwythau?

Dyma i'n cyhuddwyr resymiadau cymhariaethol a theg o'u llyfr hwy a ninnau yn gosod "Mormoniaeth," fel ei galwant, yn gydradd yn hyn â'r grefydd apostolaidd! Diolchwn iddynt am yr addefiad hwn.

Etto, er dangos twyll ysgeler, ac anwireddau rhyfygus, yr erlidiwr hwn, cymharer ei frawddegau canlynol â'u gilydd, yn nhud. 8, dywed, "Yr oeddwn ar y pryd hwnw yn neillduol yn credu eu bod hwy [y Saint] wedi eu hanfon yn *weision* awdurdodedig gan yr Arglwydd Iesu Grist, yn ol fel y proffesent hwy eu bod; ac yr oeddwn yn teimlo yn ddiolchgar iawn am fy mod wedi cael y fraint o gael derbyn yr efengyl yn ei phurdeb." Ond er ffurfio drych cywir o'i eiddo ei hun i'w ddangos ef yn ei liw priodol, gosoder yr hyn a ganlyn ochr yn ochr â'r uchod.

"Yr ydym ni wedi clywed Daniel Jones yn dywedyd mai "Judas parod oedd efe pan yr ymunodd a'r Saint; ac os ydynt yn brophwydi. pa fodd nad oeddynt yn gwybod mai twyllwr oeddwn yn dyfod atynt," ebe efe. . Dywedodd hefyd ar yr un pryd, ac er prawf o hyny, fod awydd arno i *chwareu cast** â'r *fowls* oedd yn *carthouse* fferm oedd ar ei ffordd wrth fyned tuag adref y noson wedi iddo gael ei fedyddio. Yr ydym ni yn tystio fod yr ymadroddion uchod yn wir:— David Evans, Pen-y-wern, John Jones, Mary ✕ Evans, David Evans, etto, Mary Evans."

"Yn awr, gwelir pa fath ddyn yw cyhuddwr y Saint! A dyma yr offeryn goreu a allai pregethwyr a chrefyddwyr ein gwlad gael i'n enllibio, onide ni buasent gan gywilydd yn hwi ac yn hus arno ef pe cawsent well. Ie, llyfryn dyn fel hwn a gyhoeddant, a ledaenant, a ddarllenant, ac a gredant yn rhwydd, gan ei werthu yn eu cyfarfodydd cyhoeddus! Gwarth i'n gwlad yw eu hymddygiad; a chyflawniad o'r brophwydoliaeth a ddywed y byddai rhagrithwyr yn y dyddiau diweddaf, wedi eu rhoddi i fyny i "amryfusedd cadarn fel y credont gelwydd, am na dderbyniant gariad y gwirionedd." A dyma hwy,— "Wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt." Trueni dros y werin, mai dyma chwaeth eu dysgawdwyr. Sylwer nad oes ond un o'r tystion uchod yn perthyn i'r Saint, a'r lleill yn ffermwyr parchus a geirwir; ac ar eu tystiolaeth hwy, yr hyn sydd lawer mwy cadarn nâ'r eiddo Daniel, gwelir yr achos na chawsai ei olwg, ac nad oherwydd twyll Mormoniaeth, ond ei dwyll ei hun. Ac ai tybied na chywilyddia ei gyfeillion pan ddarllenant eu dichellion twyllodrus yn ngoleu dydd? A gyhoeddant ac a ledaenant yr ochr hon i'r ystori mor felys â'r llall? Etto paham na wnant os ymofyn am wir y maent, neu os dymunant borthi eu canlynwyr â gwirionedd, ac felly eu hymddygiad a droa y ddadl am hyny.

Mae genym amryw o dystiolaethau ei gymmydogion parchus ef yn tystio iddynt glywed Daniel yn dweyd, ar ol pregeth y Saint yn Gwarallt, "ei fod ef [Daniel] yn llwyr gredu ar y pryd mai gwneyd cwnsuriaeth yr oedd Capt. Jones ac Abel Evans pan yn ei eneinio, ac yn arddodi dwylaw arno!" Mae hyna yn hollol groes i'w lyfr ef hefyd; ac ai rhyfedd fod dyn fel hwn heb dderbyn bendith gan Dduw? Crefwn amynedd y darllenydd at un dystiolaeth etto cyn taflu y "Judas" hwn, a'i lyfr, ynghyd â'i gefnogwyr, i'r waedd a'r ystlymod. lle y perthyna adar y nos. Dyma dystiolaeth un o'r ffermwyr uchaf ei gymmeriad yn y gymmydogaeth etto.—

* Ein gair ni yw "*chwareu cast*," yn lle y gair a arferodd efe, rhag dyfetha y gweddill o'i gymmeriad.

"Yr ydwyf fi yn tystio i mi glywed Daniel Jones yn dweyd os buaswn i yn ymuno â'r Saint, y credasai efe fi etto, ac yr aethai efe atynt eilwaith, efallai,—Jonathan Jones."

Profa hyn naill ai mai dyn drwg oedd efe am addaw myned drachefn at y rhai a eilw yn "gonsurwyr, twyllwyr celwyddog," &c., neu ynte, fel y cyfeiriasom o'r dechreu, mai ei "gyfeillion crefyddol" a wthient y brawddegau hyny i'w enau ef. Yn awr deuant i'w gwynebau yn oi, a chnoant eu cil arnynt, rhag ofn y bydd eu gwynebau yn duo yn eu herwydd y dydd a ddaw, pan chwythir ymaith noddfäau celwydd.

Gwel y darllenydd, weithian, y frad hon yn erbyn ein crefydd mewn "drych cywir," ac y bydd yn hawddach credu y tystion yn erbyn Daniel nâ'r eiddo ef o lawer, ac yna addefa pob dyn rhesymol mai canmoliaeth i'n crefydd yw drygau dynion fel hyn; ac oni bai yn fwy gwir, ni chynhyrfai y diafol ddynion drwg i'n camgyhuddo a'n herlid yn fwy nâ neb arall. Nid ydym yn proffesu perffeithrwydd personau, ond yn rhwydd yr addefwn ein ffaeleddau fel dynion ffaeledig ereill, gan ymdrechu byw yn fwy-fwy duwiol. Addefwn hefyd fod dynion drwg a rhagrithiol yn dyfod i'n plith ninnau weithiau, "i chwilio allan ein rhyddid," fel cynt,—rhai o ddyben drwg i gael cyfleusdra i'n camddarlunio a'n drygu; ond gwyddom nad erys y cyfryw yn ein heglwysi nemawr o amser. Ond syndod y fath gymmeradwyaeth a gaiff cyhuddiadau y cyfryw gan grefyddwyr yr oes, heb ystyried fod ymlyniad yr holl Saint ereill wrth eu proffes dan bob gwawd a rhwystrau, yn brofion cadarnach o'u gwirionedd; a'r achos o hyn yw, debygwn, oherwydd eu bod yn "caru celwydd yn hytrach ná'r gwir." Os yw yn anghenrheidiol i ni ddeall calonau dynion cyn eu derbyn, paham nad yw mor anghenrheidiol i enwadau ereill ddeall calonau y rhai a ddel atynt hwy? Os yw hyny yn ofynol, pa fodd na wybu yr apostolion am Simon Magus, a Paul am y rhai oll a'i gadawsant? O na, proffes ac ymarweddiad yw ein rheol ni i farnu, ac ni honwn ragwybodaeth am, na gallu goruwchnaturiol i ddim, ond a welo Duw yn dda ei gyfranu i ni. Ynddo ef y mae ein hymddiried ni; ac fel y dywed Paul y dywedwn ninnau er holl wawd rhagrithwyr,—"Byddwch awyddus i brophwydo, ac na waherddwch i lefaru â thafodau dyeithr." Ac etto, "Deisyfwch y doniau goreu, ond yn hytrach fel y prophwydoch." Ac wedi'r cyfan, "A'r holl bethau hyn y mae yr un a'r unrhyw Ysbryd yn eu gweithredu, gan ranu i bob un o'r neilldu megys y mae [nid arwydd-geiswyr, ond Duw] yn ewyllysio." Ac er mor ysgrythyrol yw hyn, etto, ebe ein cyhuddwyr, mae eu proffesu yn dwyll!!

Yn nesaf, dengys "Daniel DDALL," mai y ffordd benaf y daeth i ganfod twyll y Saint oedd, "*pan aethym i chwilio yn* FANWL BEUNYDD, fel y Bereaid gynt, CANFYDDAIS YN EGLUR YN YR YSGRYTHYRAU," ebe efe! Wel dyma wyrth ynte, pa wyrth fwy na bod dyn dall yn gallu '*chwilio yn fanwl*,' a chan fod yr ysgrythyrau ddigon '*eglur*' i allu sicrhau mai "twyllwyr celwyddog" yw ereill a feddent ddau lygaid! Onid dyma y dyn dall a haerai gyneu "nad oedd eisiau gwyrthiau." Ie, dim eisiau ei olwg arno ef er gallu darllen yr ysgrythyrau, ebe efe; canys credai y bod dau lygaid ei "gyfaill" diolwg yn well iddo ef nac a fuasai ei lygaid ei hun! Wel, pa fodd y cafodd ei olwg, tybied? Ynte, ai enghraifft yw yr haeriad hwn o ddallineb

triphlyg y deillion hyn! Ie, a dyma y dyn sy'n ymrithio fel angel y goleuni, a chyda rhagrith Phariseaidd, fel gwenwyn dreigiau, ebe efe, yn y llinellau nesaf braidd,—"Frodyr anwyl, [yn awr wrth y rhai â'i ysgymunasant yn warthus ychydig yn ol!] byddwch sicr a diymod yn ngwaith yr Arglwydd, a chwi yn GWYBOD nad yw eich llafur yn ofer yn yr Arglwydd." Gwir ddarfod i dad y celwydd adrodd ambell ysgrythyr pan suitiai hyny ei bwrpas i dwyllo; a meddylia Daniel a'i 'gyfaill' y gwerthai ei *falot* yn rhwyddach wedi dwbio sebon meddal hyd ei gynffon. Gyncu condemniai ei "frodyr" blaenorol, oherwydd eu bod yn proffesu eu bod yn '*gwybod*' eu bod yn eglwys Iesu Grist, a bod Duw yn un a'i addewidion, ond yn awr proffesa fod ei 'frodyr anwyl' presennol, yn '*gwybod*' yr un fath, ynte haeru y mae yn anwireddus eu bod yn meddu y *wybodaeth* hon. Pa beth sydd rhy ddrwg iddo ddweyd pan gyhuddai y Saint mai hwy oedd yn euog o'i ddrygioni ef? Ond dyma efe wedi ei ddala etto yn ei fagl ei hun." Dywedir mai "yr hwn a gloddia ffôs i'w gymmydog a gwympa iddi ei hunan."

Sylwer ar y gwadwr gwyrthiau hwn, yr hwn a wawdia ysbryd y brophwydoliaeth drwy ei lyfrau yn troi yn *Brophwyd* mawr ei hun. Ie, yn brophwyd digon gwargaled i gyhoeddi ei brophwydoliaeth i'r byd, a sylwer dyma yw, bydded yn dystiolaeth i'w erbyn i brofi o ba ysbryd y prophwyda,—"Nid yw Seintiau y Dyddiau Diweddaf ond am ychydig i'n gofidio." "Bydd *pawb* yn cilio oddiwrthynt," ebe efe. Ei ewyllys ef a brophwyda, ac nid efe yw y cyntaf i chauntio *funeral knell* '*Mormoniaeth*,' o lawer; ac er y cwbl, diolch i'w hawdwr, y mae hi yn fyw, ac yn iach, ac yn llwyddo, a lluosogi yn fwy nâ holl sectau ein gwlad; ac ni raid wrth ysbryd prophwydoliaeth i ragweled mai llwyddo a wna hefyd; erlidiant, camgyhuddant, gwingant, a gwnant a fynont i'w herbyn, nid y'nt oll ond o'u hanfodd yn ei helpu yn y blaen. A'r *secret* fawr o'r cyfan yw, fod Duw ynddi, drwyddi a throsti; ei waith ef yw. Er gwaeled yr offerynau a ddefnyddia, efe a'u nertha trwy ei Ysbryd Glân nes tynu noddfäau celwydd a chestyll rhagrithwyr i'r llawr, hyd nes y caffo y rhai gonest eu calon sydd yn chwilio am y gwir afael ynddi, a dyfod yn etifeddion bywyd tragywyddol drwy ufydd-dod i'w hordinhadau dwyfol, yw gwir ddymuniad ein calon dros bawb er eu lles hwy, a gogoniant Duw. Amen.

MERTHYR-TYDFIL: CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES.

JOHN JONES, ARGRAFFYDD, RHYDYBONT.

